# DWY GAN.

---

GAN JONATHAN J. THOMAS,

(NATHAN DDU O LYWEL.)

---

## Y GENADWRI.

TON—*Y Tri Thrawiad.*

PAN ydoedd gweithredoedd
Anafus dan nefoedd,
Twyll trais, a therfysgoedd rhwng lluoedd y llawr;
A'r gonest, er tristwch,
Dan wallus dywyllwch,
Yn rhodio mewn d'ryswch rhodresfawr.

Duw Ion o'i dirioni,
Anfonodd o fyny,
Ei dêr genadwri, er lloni pob llu;
'R efengyl dragwyddol,
Dda, ddinam, ddyddanol,
'Rhon gaed yn gynoesol gan Iesu.

Gan Iesu, deyrn grasol,
Wir hael, y mae'r rheol,
Un anghyfnewidiol a bywiol i'r byd;
Trwy hon ca'r crediniol
Ei ddoniau dyddanol,
A'i Ysbryd cain nerthol ni wrthyd.

Da hollawl ewyllys
Rhi* nef i rai 'nafus,
Yw rhoddi'n gariadus ei felys ddawn râd;
Gwell trysor nâ'r aur-coeth,
A renir i'r annoeth,
O gyfoeth cynnil-doeth ein Hael-Dad.

Am roi'r ddawn i ddynion,
Bydd mawl gan angylion;
A saint yr uchelion, llu tyrfion y Tad,
A felys gyd folant,—
Pob enaid, pawb unant,
I roddi'r gogoniant ar ganiad.

I'r dyfroedd godidog,
Gwahoddir chwi'n serchog,
Y sych, y newynog, a'r llwythog yn llu;
Pob rhinwedd a feddant,
Eich loesau achlesant,
Cewch sicrwydd nas methant eich maethu.

Mae'r diafol a'i weision
Yn llunio cynllwynion,
Er rhwystro'r bendithion i ddynion gan Dduw;
Er hyn eu gwawl nerthol,
Fal ffrwd anorchfygol,
Ddylifa'n gynnyddol, gwn, heddyw.

* Arglwydd.

## Y TRYSOR O'R MYNYDD.

TON—*Belisle March.*

O GUMORA fe gymmerwyd,
A rhoddwyd ini'n rhad,
O ddirfawr draserch, ddihafal drysor,
Modd têr gan Iôn, ein Tad;
Trwy anfon angel, fal pan ddoi ingoedd
Ar luoedd daear lawr,
Y cai a goeliai ddiogelwch
Yn nydd y digter mawr.
Y gain efengyl gu
Anfonodd Naf i ni,
Yn nawdd didwyll awdurdodol,
Dda, freiniol oddi fry,
Rhag rhuthr alaeth certh gythreuliaid,
Ynghyd â'r bleiddiaid blin,
Sy'n hel eu lluniaeth wrth gynllwynio,
Gan rithio i dwyllo dyn.
A'r offeiriadaeth wiw,
'Nol urdd a threfn Mab Duw,
Gallu o fywyd annherfynol,
Rhinweddol, rasol ryw,
Grym yr adgyfodiad cynta',
Nerth y Jehofa mawr;
Dyma drysor ymddiriedwyd
Mewn llestri priddion llawr.

Dyma'r deyrnas welodd Daniel
Dihafal yn ei hynt,
Yr hon mor lluniaidd a fu'n lloni
'Rhen gain brophwydi gynt;

Am hon dysgwyliodd, mewn dwys galon,
Holl weision dewrion Duw,
A throsti'n fanwl taer erfyniodd
A gweddiodd Iesu gwiw.
Yr oruchwyliaeth fawr
Ar goedd, mor deg ei gwawr;
Cyflawnder siriol yr amseroedd,
Er adfer lluoedd llawr;
A dwyn gogoniant y milflwyddiant
I mewn mewn llwyddiant llon,
A gwneyd yr Iesu'n deyrn urddasol,
Modd breiniol, ger eu bron.
'Nol hyn santeiddrwydd fydd
Ar ffrwynau'r cadfeirch rhydd,
A gwir heddwch, mwyn gwareiddiol,
Yn ol ei reol rydd.
Derfydd galar ac wylofain,
Y rhyfel certh a'r haint;
Bydd hedd y Duwdod rhwng bwystfilod,
Er syndod i'w holl Saint.

[Cyhoeddwyd, trwy ganiatâd, Ebrill 26, 1851.]

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.